## PENNOD II.

### Y BEIRDD.

### PARCH. E. EVANS (*Ieuan Brydydd Hir*

FEL Bardd, ac nid fel Gweinidog yr efengyl, y darfu i I. B. Hir enwogi ei hun yn mysg y Cymry. Rhestrir ef gan y Cymry yn gyffredinol yn un o ddysgedigion penaf ei oes, ac yn fardd awenyddol a grymus. Mae yn debyg mai fel Hynafiaethydd a Bardd yr oedd enwogrwydd Ieuan Brydydd Hir yn gynwysedig. Dywed un Beirniad dysgedig ei fod "fel Bardd yn un o'r rhai penaf a welodd Cymru erioed. Nid ydym yn ameu nad oedd efe yn gyfartal i Goronwy Owen ei hun; ond pa un bynag am hyny, yr wyf yn gwybod fod G. Owen ei hun yn ei gyfrif yn brif fardd Cymru. Bum yn darllen anerchiad i berwyl felly yn ddiweddar o waith G. Owen ei hun."

Ganwyd Ieuan yn Nghynhawdref, yn mhlwyf Lledrod, Swydd Aberteifi, yn y flwyddyn 1730. Gan fod ei hanes a'i weithiau yn lled adnabyddus i genedl y Cymry, ni raid i ni ei ail adrodd yma. Bu yn gwasanaethu fel Ciwrad yn Llanllechid am tua blwyddyn, sef o'r flwyddyn 1758 hyd 1759. Os oedd Ieuan yn fardd rhagorol, yr oedd yn un hollol annghrefyddol. Dywedir ar ol iddo fod unwaith yn cyd-yfed â hen fardd o'r enw Dafydd Sion Pirs, a hyny hyd ganiad y ceiliog foreu Sul, iddynt fyned gyda'u gilydd i'w gorweddle. Deffrôdd Dafydd, pan y clywodd gloch y Llan yn canu, a rhoddodd bwniad i Ieuan yn ei ystlys â'i benelin, gan ddywedyd wrtho,

"Clywch, dd——l, y gloch ddydd."

I'r hyn yr atebodd Ieuan,

"Dyn ā maen a dyno'i menydd."

Bu farw yn Awst 1788, yn 58 mlwydd oed. Claddwyd ef yn mynwent Lledrod, yn swydd Aberteifi.

GRIFFITH WILLIAMS (*Gutyn Peris*).

Ganwyd Gutyn Peris Chwefror 2, 1769, yn y lle a elwir Hafod-oleu, yn mlaen plwyf Llanbeblig. Ei dad oedd W. Williams, ail fab Mr. Edward Williams, o'r Llwyncelyn, yn mhlwyf Llanberis. Mae yn ymddangos na chafodd ond un flwyddyn o addysg ddyddiol pan yn blentyn. Wedi iddo dyfu yn 17 neu 18 oed, ystyriai ei hun yn cael bychan o arian, a chlywodd eu bod yn cymeryd pobl i agor chwarel y Cae: daeth yno, a chafodd le i weithio am swllt yn y dydd. Cafodd le i letya gyda gŵr o'r enw Abraham Williams, amaethwr yn Gwaen-y-gwiail, yr hwn hefyd oedd yn fardd lled dda, yn deall y pedwar mesur ar ugain yn dra manwl. Y gŵr hwn a fu yr athraw cyntaf i Dafydd Ddu Eryri. Tra bu Gutyn Peris yn lletya gydag ef, dysgodd reolau barddoniaeth iddo yntau.

Yr ydym yn deall fod G. Peris wedi cyfansoddi llawer mewn rhyddiaith a barddoniaeth. Ni chyhoeddodd ond un llyfr, a hwnw yn llyfr barddonol o'r enw "Ffrwyth Awen;" ond gadawodd ar ei ol ddefnyddiau dau lyfr arall mewn ysgrifen yn barod i'w hargraffu. Ystyrir mai prif orchestion barddonol G. Peris ydynt, "Awdl Coffadwriaeth Goronwy Owen," am yr hon y derbyniodd dlws arian. Hefyd ei awdl ar "Flwyddyn y Jubili," am yr hon y derbyniodd gwpan arian. Hefyd ei "Goffadwriaeth i'r Frenines Charlotte." "Gwledd Belsassar." "Drylliad y Rothsay Castle." Barnwyd ef yn ail oreu ar y testyn o 19 o ymgeiswyr, am yr hon y derbyniodd £10, a thlws gwerth £5. Cyn terfynu hyn o sylwadau, ni a ddyfynwn farn Caledfryn ar Gutyn Peris. Dywed ef fel hyn:—"Yr oedd Gutyn Peris

yn fardd enwog, ei feddyliau yn sylweddol ac yn wreiddiol. Yr oedd ei iaith yn dda, a'i gynghaneddion bob amser yn rheolaidd, ac yn fynych yn dlws ac yn gryfion. Nid oedd nemawr fardd o'i oes a ddylynai ei destyn yn well nag ef, yn ol ei olygiadau ef arno; ond nid oedd ei ddarfelydd yn gryf, na'i olygiadau yn eang." Bu farw Medi 18fed, 1838, yn 70 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent Llandegai, lle y cyfodwyd cof-golofn ddillynaidd ar ei orweddfa.

W. WILLIAMS (*Gwilym Peris*), CARNEDDI.

Ganwyd G. Peris yn Tyn-yr-Algarth, Llanberis, yn y flwyddyn 1719. Ychydig o fanteision addysg a gafodd erioed, ddim pellach na thrwy ei lafur a'i ddiwydrwydd ei hun. Daeth o Lanberis i blwyf Llandegai pan tuag 20 oed. Ystyrid G. Peris yn uchel yn mysg beirdd ei oes. Yr oedd ei iaith yn dda ac yn gref, ac fe'i hystyrid yn gynghaneddwr campus. Cyhoeddodd lyfr barddonol gwerth 1s. 6c. o'r enw "Awengerdd Peris," yr hwn sydd yn cynwys Awdlau, Cywyddau, Englynion, Cerddi, Carolau, &c. Daeth ail argraffiad ohono tua'r flwyddyn 1843. Dywed G. Caledfryn amdano fel hyn, "Gwilym Peris ydoedd fardd gwreiddiol o ran ei syniadau, ei iaith yn gref, ond yn lled fynych yn dywyll; a'i gynghanedd wedi ei hastudio yn fanwl." Claddwyd ef yn mynwent Llanllechid, yn y flwyddyn 1847, yn 78 mlwydd oed.

HUGH DERFEL HUGHES, PENDINAS.

Ganwyd Mr. Hughes yn Clettwr Llandderfel, yn y flwyddyn 1816. Daeth i drigianu i Llanllechid yn y flwyddyn 1846. Ystyrir Derfel yn fardd da, a llawer o dlysni yn ei waith. Mae wedi cyfansoddi cryn lawer mewn barddoniaeth. Cyhoeddodd ddau lyfr barddonol

o'r enw, "Blodau'r Gân," a'r "Gweithiwr Caniadgar." Ystyrir Derfel yn Hynafiaethydd rhagorol hefyd. Cyhoeddodd yn y flwyddyn 1866 gyfrol hardd gwerth 3s. 6c., ar "Hynafiaethau Llanllechid a Llandegai."

JOHN GAERWENYDD PRICHARD.

Saif Gaerwenydd yn uchel yn rhestr y Beirdd. Mae efe yn fardd ariandlysog, ac yn Gadeirfardd. Ganwyd ef yn y Gaerwen, Môn, Ebrill 5ed, 1837. Pan yn 14eg oed, dechreuodd ar y gwaith o ddilledydd gyda'i dad yn y Gaerwen. Yn mhen ychydig flwyddi daeth at ei ewythr R. Humphreys i Bethesda, ac yno yr ymsefydlodd. Mae yn bresenol yn cynal masnach fel Tailor and Draper. Mae wedi cyfansoddi cryn lawer, ac ystyried ei oed; ac mae llawer o'i gyfansoddiadau wedi cael yr anrhydedd o fod yn fuddugol mewn Eisteddfodau a chyfarfodydd Llenyddol. Cawn enwi rhai o'i brif weithiau barddonol. PENILLION—"Y Cryd." Buddugol. "Y Beibl." Buddugol. ENGLYNION—"Coffawdwriaeth am y diweddar Barch. Morris Jones, Jerusalem." Buddugol. Yn nghyda lluaws o englynion a phenillion ar wahanol destynau ereill. PRYDDESTAU—"Dedwyddwch." Buddugol. "Crist yn y Deml gyda'r Doctoriaid." Buddugol. "Ioan yn Ynys Patmos." "Y Pharisead a'r Publican yn y Deml," Buddugol. "Marwnad i'r diweddar Mr. W. Thomas, Caellwyngrydd." Cyd-fuddugol. "Carchariad Garibaldi." Buddugol. "Bugeilgerdd," &c. CYWYDDAU—"Y diweddar Golyddan." "Y diweddar Mr. D. Prichard, Braichmelyn." "Yr Enaid." Buddugol. "Yr Oruwchystafell," Buddugol. "Cwymp Llywelyn." Buddugol. "Pont Menai," am yr hon y derbyniodd ariandlws. AWDLAU—"Adda." "Oen y Pasc." Awdl-

Gadeiriol, yr hon a ymddangosodd yn y Traethodydd am Gorphenhaf 1866, ac am yr hon y dywed "Baner ac Amserau Cymru," yn ei hadolygiad ar y rhifyn hwnw. "Y peth nesaf yn y rhifyn ydyw "Awdl ar Oen y Pasc," gan Gaerwenydd, yr hon a enillodd i'w hawdwr yr anrhydedd o fod yn "*Fardd Cadeiriol*," yn Eisteddfod Cymreigyddion Bethesda, Ddydd Gwyl Dewi, 1866; ac yn wir, rhaid i ni gyfaddef, er nad ydym yn orhoff o'r gynghanedd, nac yn meddu syniadau uchel iawn am Awdlau Cadeiriol yn gyffredin, fod yr awdl hon yn meddu graddau helaeth o deilyngdod awenyddol. Mae yn ddernyn tlws, coethedig, a gwir farddonol; ac nid ydym yn tybied fod yr amser yn mhell pan y gwelir Gaerwenydd yn eistedd fel buddugwr yn Nghadair yr Eisteddfod Genedlaethol, ac yn cael ei restru yn mysg '*prif feirdd*' ein gwlad."

JOHN DAVIES, PENYBENGLOG.

Gŵr genedigol o Drefriw oedd J. Davies. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1799. Derbyniodd ei addysg foreuol gyda Mr. Davies, yn Ysgol Râd Llanrwst; ac hefyd gan y Parch. W. Jones, Nantglyn, yn Nghapel Mawr Llanrwst. Pan tua 22ain oed, daeth i fyw i Blaen-y-nant, Llandegai; a thua'r flwyddyn 1830, symudodd i fyw i Benybenglog, lle y treuliodd weddill ei oes. Bu farw yn 1866, yn 67 mlwydd oed

Cydnabyddir J. Davies yn llenor coeth. Yr oedd yn Gymreigydd da, yn fardd bywiog, yn ddaearegwr rhagorol, ac yn Hynafiaethydd manwl. Cyfansoddodd lawer mewn barddoniaeth. Fe ymddangosodd llawer o'i waith yn y Cyhoeddiadau Cymreig. Cyhoeddodd un llyfr barddonol o'r enw "*Blaenffrwyth Awen*." Ysgrifenodd lyfr o'r enw, "*Taith o Bethesda i Gapel Curig*," yr hwn

sydd yn cynwys daeareg y lle, yn nghyda hanes a dysgrifiad o'r amrywiaeth rhedyn sydd i'w cael o Bethesda i Gapel Curig.

---

## PENNOD III.

### Y CERDDORION.

#### GRIFFITH ROWLANDS (*Asaph, Bethesda*).

Mab ydyw "Asaph" i'r diweddar gerddor a bardd Mr. Rowland Griffiths, Bethesda. Ganwyd "Asaph" yn Blaen y Cae, plwyf Llandwrog, yn y flwyddyn 1807. Daeth i fyw i Bethesda gyda'i dad pan tua 15 oed. Yr oedd yn llawn awydd at ganu pan yn fachgen tra ieuanc; ac yr ydym yn cael fod ei dad a'i daid yr un fath o'i flaen. Byddai ei dad a'i gyd-gymydogion yn ymgasglu at eu gilydd y nos i ymryson canu hen dônau Cymreig, a "phawb a'i benill yn ei gwrs, heb son am bwrs y cybydd." Yn mhen ychydig amser wedi d'od i fyw i Bethesda, aeth "Asaph" at yr anfarwol Robert Williams, Cae Aseth, i Hen Gapel yr Achub, am wers gerddorol; a dyma y wers gyntaf a gafodd erioed. Bu gyda R. Williams amryw weithiau ar ol hyn, fel y mae yn briodol ei alw yn dad cerddorol i Asaph. Cydnabyddir ef erbyn hyn yn deilwng i'w restru yn mysg prif gerddorion ein gwlad. Cawn ei fod wedi cyfansoddi cryn lawer. Cyfansoddodd o 15 i 20 o Anthemau, yn nghyda lluaws o donau, ac alawon, &c. Bu yn fuddugol ac yn ail yn Eisteddfodau Cerddorol Bethesda, 1851, 1852, a 1853. Enillodd y brif wobr yn Eisteddfod Aberdare, sef, pum gini, yn y flwyddyn 1859. Nid yn unig mae Asaph wedi bod yn ffyddlawn fel cerddor, ond mae wedi bod yn dra ffyddlawn

fel arweinydd y canu yn Bethesda er's 38 o flynyddau. Yn y flwyddyn 1857, cafodd ei alw i fod yn ddiacon yn yr eglwys Annibynol yn Bethesda.

RICHARD ROBERTS, CARNEDDI.

Ganwyd R. R. yn Tyddyn Ellen, Llanrug, yn y fl. 1808. Ychydig o hyfforddiant a gafodd erioed mewn cerddoriaeth; ond trwy ei lafur a'i ddyfal barhâd, daeth yn lled gyfarwydd yn elfenau y gelfyddyd. Cydnabyddir R. Roberts yn gerddor lled dda. Cyfansoddodd lawer o Dônau, Alawon, &c. Daeth i Bethesda i fyw pan yn bur ieuanc, a sefydlodd ei hun yma. Bu yn arweinydd y canu yn y Carneddi am lawer o flynyddoedd, ac mae yn ddiameu mai fel arweinydd canu y mae wedi enwogi ei hun yn benaf.

---

## PENNOD IV.

### CYMERIADAU AMRYWIAETHOL.

JOHN W. THOMAS (*Arfonwyson*).

Arfonwyson oedd fab i William Thomas yr Allt, ger Pentir, plwyf Bangor. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1805, a bu farw yn Mawrth 12fed, 1840, yn 35 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent St. Alphage, yn Greenwich. Pan yn saith oed, cafodd fyned i'r ysgol at Mr. William Thomas, i Bentir. Bu yn yr ysgol hono am dair blynedd. Gan fod amgylchiadau ei dad yn lled isel ar y pryd, bu gorfod iddo gymeryd John o'r ysgol pan yn ddeg oed, er mwyn cael ychydig wasanaeth ganddo. Pan yn bedair-ar-ddeg oed, cafodd le i enill pum swllt yn yr wythnos o gyflog. Yn fuan cafodd ychydig o godiad yn ei gyflog. Byddai yn

defnyddio ei holl oriau segur y pryd hwn i ymarfer â Rhifyddiaeth. Wrth fod yn ddiwyd fel hyn, dysgodd ddarllen, ac ysgrifenu, a'rhifo, yn weddol dda, erbyn ei fod yn 17 mlwydd óed. Ar ol hyn aeth yn lyfrwerthwr i un o'r enw Joseph Jones o Beaumaris. Er mai gwaith lled annymunol fuasai hyn gan ambell ddyn, yr oedd wrth fodd calon Arfonwyson, a hyny yn benaf am fod y cyfleusdra yn fanteisiol iawn iddo gael llyfrau iddo ei hun. Mae yn ymddangos nad oedd ganddo nemawr o lyfrau cyn hyn. Tra y bu yn y lle hwn, ei brif bwnc o hyd fyddai Rhifyddiaeth. Pan yn 18 oed, aeth i'r ysgol i Gaergybi at Mr. Robert Roberts, awdwr y "DAEARYDDIAETH." Yn mhen tri mis dychwelodd yn ol o Gaergybi wedi dysgu cymaint ag a allai Mr. Roberts iddo, yna dechreuodd gadw ysgol yn Tre'rgarth, Llandegai. O hyny allan yr ydym yn ei ystyried yn deilwng o'i restru yn mhlith "*Enwogion Llandegai.*" Pan yn y lle hwn, yn ei oriau hamddenol, dechreuodd ysgrifenu ei "ELFENAU RHIFYDDIAETH." Pan yn 21 mlwydd oed, efe a briododd, ac a aeth i fyw i Fangor. Symudodd yn fuan o Fangor i gadw ysgol yn Ffestiniog, o dan nawdd y Parch. James H. Cotton, diweddar Ddeon Bangor. Collodd ei le yn fuan yn y lle hwn, oherwydd iddo ysgrifenu rhywbeth yn erbyn rhyw Offeiriad. Dychwelodd yn ol i Fangor. Y pryd hwn cyhoeddodd y "Geiriadur," a'r "Athraw." Yn y cyfamser dechreuodd gadw ysgol yn Nglanyrafon, Bangor. Ni bu yn hir yn Mangor, ond symudodd i Lôn-isaf, Llandegai, lle yr oedd ei rieni yn byw er's blynyddau. O'r Lôn-isaf aeth i Lundain, lle y cafodd dderbyniad croesawgar gan y Cymreigyddion. Bu yn Llundain gryn amser cyn cael lle; ond cafodd le yn ysgrifenydd i foneddwr o'r enw Mr. Cobbett, yr aelod seneddol dros Oldham.

Tua'r amser yma y cyfansoddodd y llyfr rhagorol hwnw, "TRYSORFA'R ATHRAWON." O'r lle hwn, cafodd le i fyned i'r Arsyllfa Freninol yn Greenwich, lle yr aeth rhagddo yn dra llwyddianus. Yn yr Arsyllfa hon ysgrifenodd amryw Almanaciau tra dyddorol. Pan yn y lle hwn hefyd y bu y dadleuon brwd rhyngddo a Dr. Morgan a D. R. Stephen. Wedi yr holl lafur hwn, bu farw yn ddyn ieuanc, dim ond 35 mlwydd oed.

Gyda golwg ar gymeriad llenyddol a galluoedd meddwl Arfonwyson, yr ydym yn teimlo ein hunain yn hollol analluog ac annghymhwys i draethu ein meddwl arnynt. Cydnabyddir gan bawb fod Arfonwyson yn un o brif lenorion cenedl y Cymru, yn enwedigol felly fel ieithyddwr a rhifyddwr. Rhestrir ef yn uchel fel bardd, ac yn neillduol fel beirniad. Mae yn debyg mai fel rhifyddwr yr enillodd ef ei enwogrwydd yn benaf; er y cydnabyddir ef yn fardd da, yn ieithydd rhagorol, ac yn seryddwr galluog. Nis gallwn derfynu hyn o sylwadau heb ddyfynu ychydig linellau o'i gofiant galluog gan Huw Tegai, yr hwn a ymddangosodd yn y "SEREN GOMER" am y flwyddyn 1849. Dywed Tegai amdano fel DYN PENDERFYNOL EI FEDDWL,—"Gwron ydoedd na throai yn ol er neb. I hyn yn benaf yr ydym i briodoli ei lwyddiant dihefelydd yn gallu casglu y fath gnydau oddiar faesydd toreithiog hanesyddiaeth. Od oes rhyw efrydydd ieuanc yn meddwl dylyn brisg traed Arfonwyson, mae yn rhaid iddo benderfynu cychwyn fel y cychwynodd ef, a phenderfynu myned yn mlaen ar ol cychwyn fel yr aeth ef. Ond pa fodd i ddechreu (gofyna rhywun) ffurfio y fath benderfyniad? Ateb, Fel hyn:—Mae yn rhaid bod yn dra hunanhyderus. Felly yn union yr oedd Arfonwyson. Credai ef nad oedd dyn wedi ei eni erioed rhagorach nag ef ei

hun, ac o ganlyniad, nad oedd un dyn wedi dysgu dim nad allasai yntau ei ddysgu. Heb fod felly, nid aethai byth i'r man yr aeth; ac nid â neb byth ar ei ol ef, heb fod fel yntau. Un Arfonwyson a gafodd Cymru eto: ond gall gael cant drwy ei gymeryd ef yn gynllun i weithredu." Amdano fel GWLADGARWR dywed Tegai, "Yr oedd gwres ei wladgarwch yn nodwedd mor hynod yn ei gymeriad a nerth ei dalent. Gallem ddyfynu llawer iawn o'i lythyrau yn mhellach, i brofi fod Arfonwyson yn aelod byw yn Nghymdeithas y Cymreigyddion Un a "garai lwydd gwŷr ei wlad" mewn gwirionedd ydoedd. Ni allai gwychder Llundain, nac anrhydedd yr Arsyllfa, beri iddo ef annghofio ei hen gyfeillion llwydaidd Cymreig. Pan ddygwyddai iddo gael cyfle i anfon llythyrau at ei gyfeillion i Gymru yn ddigost, eisteddai i ysgrifenu o 20 i 50 yn y fan, a mawr oedd ei lawenydd pan y daeth y llythyrdoll Ceiniog, er na chafodd ond ychydig iawn o'i fudd. Dyma ychydig o lawer a allasem nodi o engreifftiau o wladgarwch a chyfeillgarwch Arfonwyson." Fel BARDD, dywed amdano ei "fod yn deall rheolau Barddoniaeth rydd a chaeth yn fanwl iawn; ond am Farddoniaeth ei hun, mae yn amheus genym a ddeallodd erioed beth ydoedd: o leiaf nid oedd yr un farn a'r prif feirniaid barddonol. Fel cyfansoddwr barddoniaeth, gellir ystyried Arfonwyson yn gryno a synwyrol, ond yn mhell o fod yn wir farddonol." Fel IEITHYDD dywed amdano, "Gallesid meddwl, wrth ei weled a'i glywed yn trafod amryw o'r rhai a alwent eu hunain yn ysgolheigion, ei fod yn un o'r ieithyddion goreu yn y byd. Gwyddom am amryw amgylchiadau, heblaw yr helynt gyda Dr. Morgan, yn profi hyny. Nis gwyddom pa fath Seisnigydd ydoedd. Clywsom rai beirniaid da yn dyweyd ei fod yn

deall y Seisoneg yn dda, ac yn ei chyfansoddi yn dda, a'i pharablu' yn ddrwg: ond fel Cymreigydd, nid oes arnom ddim arswyd wrth ei gyfrif yn ORAF o'i holl gydwladwyr, a chymeryd pob peth gyda'u gilydd. Deallai ef elfenau a chyfansoddiad yr iaith i'r manyldeb eithaf, ac ysgrifenai hi mor ddestlus, fel nas gellid ond yn anfynych wella dim yn ei frawddegau. Nid ydym yn meddwl fod yr un ysgrifenydd Cymreig a ddeil gystadleuaeth âg ef yn hyn." Amdano fel GOLYGYDD CYHOEDDIAD dywed Tegai, "Dichon y dylasem wneyd rhyw sylw o Arfonwyson yn ei gymeriad Golygyddawl, pan yr oedd y "TYWYSOG" dan ei ofal. Ni chrybwyllwn yn awr ond yn unig fod ei olygiadau gwladol a chrefyddol, fel y gwelir yn y cyhoeddiad dan sylw, yn dra rhyddfrydig. Mae ei gyfansoddiadau ef ei hun oll yn deilwng ohono ei hun yn y misolyn hwn; ond gwall mwyaf y cyhoeddiad oedd, fod ynddo ormod o waith ysgrifenwyr lled ddirym; a ffaith hynod ydyw ei fod ef wedi cyd-oddef cystal â gohebwyr mor llesg a'r rhai y cyfeiriwn atynt."

Dyma ni yn awr yn terfynu gyda hanes Arfonwyson, gyda dadgan ei fod mor gyflawn ac mor gywir ag y gallasem ni ei gael ef.

### WALTER GRIFFITH (*Gwallter Bach*).

Mab ydoedd W. Griffith i'r diweddar Barch. David Griffith, Gweinidog parchus gyda'r Annibynwyr yn Ruabon (Bethesda gynt). Ganwyd ef yn Talysarn, Nant-nantlle, plwyf Llandwrog, yn y flwyddyn 1819. Derbyniodd ei addysg foreuol yn ysgol Tyntwr, gyda T. Williams, a gwnaeth ddefnydd da ohoni. Yr ydym yn deall i'w rieni symud o Talysarn i Bethesda, pan nad ydoedd Walter ond bachgen ieuanc. Wedi iddo gael addysg briodol, rhwymwyd ef yn egwyddorwas yn Be-

thesda. Wedi gorphen ei ymrwymiad, symudodd i fasnachdy yn Manchester. Wedi bod yn y lle hwn am ysbaid o amser, ymunodd â'r gymdeithas hono, "*Anti-Corn-Law-League*," fel darlithydd i'r Cymry ar ran y gymdeithas, ac nid oes un amheuaeth na bu o fawr les i'r symudiad. Gyda golwg ar gymeriad llenyddol W. Griffith, ystyrir ef yn llenor campus. Rhestrir ef yn uchel yn mysg y beirdd. Cyfansoddodd lawer o Hymnau, Cywyddau, Awdlau, Traethodau, &c. Cydnabyddir ef hefyd fel darlithiwr yn y dosbarth cyntaf. Ond mae yn debyg mai fel *ystadegwr* y daeth mwyaf o'i allu meddyliol ef i'r golwg yn ei oes fer. Bu farw o'r darfodedigaeth yn y flwyddyn 1846, yn 27ain mlwydd oed, gan adael priod i alaru ar ei ol. Claddwyd ef yn mynwent perthynol i gapel Bethlehem, ger Talybont, Llanllechid.

### THOMAS WILLIAMS, TANYSGRAFELL.

Brawd oedd T. Williams i Gwilym Peris. Daeth i gymydogaeth Bethesda o Lanberis yn bur ieuanc. Ystyrid ef yn rhagori fel llenor ar ei gymydogion, yn neillduol felly fel rhifyddwr. Rhestrir ef a'i frawd Hugh Williams, Carneddi, yn mysg rhifyddwyr goreu ein gwlad. Ysgrifenodd y ddau lawer i'r hen Seren Gomer ar y gangen hon o lenyddiaeth. Clywsom fod colofn o'r Seren Gomer at eu gwasanaeth bob mis am amryw flynyddau. Bu T. W. farw yn y flwyddyn 1858, yn 81 mlwydd oed; a H. W. yn y flwyddyn 1849, yn 75 mlwydd oed. Dylem grybwyll gair am James Williams, mab H. Williams, yr hwn a ystyrid yn un o rifyddwyr penaf y ddau blwyf hyn. Amryw flynyddau yn ol ysgrifenodd lawer i'r Newyddiaduron o dan yr enw "Bachgen o Arfon." Cynwys ei erthyglau yn gyffredin

fyddai adolygiadau ar y prif weithiau sydd genym yn yr iaith Gymraeg. Mae yn aros yn bresenol yn Australia.

Wel, yn awr, wedi hir ymdroi yn nghyfeillach cryn nifer o "Enwogion Llanllechid a Llandegai," mae yn rhaid i ni ddyrwyn yr hanesyn i fyny; eto, wrth roddi ein hysgrifell heibio, pell ydym o feddwl ein bod wedi dihyspyddu holl adnoddau ein testyn. Teimlwn fod ein serch at le ein genedigaeth yn ddwfn-reddfol yn ein calon. Felly yn ddiameu y gwna pawb ereill; a dyma yr esgus sydd genym dros y gorchwyl a gymerasom mewn llaw. Gallem ddyweyd i ni ysgrifenu yr hyn a ysgrifenwyd genym mewn ysbryd cariadlawn; nid er hunanglod, ond yn hytrach i ddangos beth oedd a beth ydyw ansawdd Llenyddiaeth yn y fangre a garwn, sef Llanllechid a Llandegai; ac hefyd, er gwneyd coffâd parchus o luaws o enwogion a anwyd ac a ddygwyd i fyny ynddynt. Er nas gallem, megys ag y sylwasom o'r blaen, ymffrostio i ryw oleuadau mawrion, yn ffurfafen lenyddol ein cenedl, godi o'r plwyfydd hyn; eto gwelir fod yma luaws o ser dysglaer wedi bod yn llewyrchu yn yr oesau gynt, pan oedd nos anwybodaeth yn gorchuddio y wlad; a bod Cymru yn ddyledus i'r plwyfydd hyn am luaws mawr o enwogion yr oes hon, a hyny fel Gweinidogion yr efengyl, Beirdd, Cerddorion, Meddygon, Peirianwyr, Rhifyddwyr, &c.

DIWEDD.

# RHESTR O'R TANYSGRIFWYR.

**Rhoddir rhifnod ar ol enw pob tanysgrifiwr sydd wedi addaw cymeryd mwy nag un copi, i ddangos pa nifer y mae yn gymeryd.**

Y Gwir Anrhydeddus James Colquohoun, Arglwydd Esgob Bangor 5
Archddiacon J. Evans, M.A., Llanllechid 2

Abraham, Mr. William, Parc
Colliver, Capt., Brynhall 5
Colliver, William, eto 2
Corry, Mr. W., Caellwyngrydd
Davies, Parch. J. Price, Rachub
Davies, .. William, Bethesda
Davies, Mr. Morris, Up. Bangor
Davies, Mr. Morris, Tynycoed
Davies, Mr. D. Mount Pleasant
Davies, Mr. D. J., Coed-y-parc
Davies, Mr. O. M., Tanyrhiw
Davies, Mr. Morgan, Cefncwlyn
Davies, Mr. J. (Eos Ogwen) 12
Davies, Mr. W., Cae'rgroes
Davies, Mr. Robert, Henbarc
Davies, Mr. John, Coetmor
Davies, Mr. J. R., Court Bethesda
Davies, Mr. O. (Eos Llechid) 2
Davies, Mr. E., Drug., Bethesda
Davies, Mr. J., Ysgol., Bodfeirig
Davies, — Richard, Braichgwair
Davies, — Robert, Freithwen
Davies, — Richard, Penrhiw
Davies, — William, Fronbant
Davies, — William, Tyntwr
Davies, — W. W., Brynteg
Davies, — D., Caellwyngrydd
Davies, — G., Garneddwen
Davies, — Isaac, Penybryn
Davies, — T. W., Coedyparc
Davies, — William, Penybryn
Davies, — D. R., Caellwyngrydd
Davies, — William, Rhiwlas
Davies, — Robert, eto
Davies, — David, Gerlan
Davies, — Hugh, Water-street
Davies, — D. E., Clwt-y-maen
Davies, — R., Caellwyngrydd
Davies, — Griffith, Coedyparc
Davies, — O., Caellwyngrydd
Davies, — David D., eto
Davies, Mr. William, Joiner, eto
Davies, — Hugh, Brynteg
Davies, — Evan, Bwlch
Davies, — W., Tai'rmynydd
Davies, — John, Bontuchaf
Davies, Miss C., Carneddi
Ellis, Parch. John, Shiloh
Ellis, Ysw., H. Meddyg, Bangor
Ellis, Mr. Ellis H., Bangor 10
Ellis, — D., Butcher, Bethesda
Ellis, — David, Blue Bell, eto
Ellis, — Owen, Talybont
Ellis, — John, Parc
Ellis, — John, Fron
Ellis, — David, Bryniau
Ellis, — E. H., Myn. Llandegai
Edwards, Ysw., E. Pen. *Hosp.*
Edwards, Mr. J. Barber, Bethesda
Edwards, — William, Gerlan
Edwards, — Thomas, Bethesda
Edwards, — W., Caellwyngrydd
Edwards, — G. W., Llanllechid
Edwards, — John, Bethesda
Edwards, — Ed. J., Jerusalem
Edwards, — Wm. Carneddi
Edwards, — Thomas, eto
Edwards, — W., Caellwyngrydd
Edwards, — Thos., Grey street
Edwards, — W., Pantdreiniog
Edwards, — T., Caellwyngrydd
Edwards, — Hugh, Bethesda
Evans, — Robert, Bronydd
Evans, — J., Carrier, Bethesda
Evans, — Daniel, Llanllechid
Evans, — J. W. RedLion, Bangor
Evans, — R. Royal Oak, Rachub
Evans, — Thos., Upper Bangor
Evans, — John, Bontuchaf
Evans, — William, Carneddi
Evans, — Moses Robert, eto
Evans, — M. Llidiartygwenyn

Evans, Mr. W. H. M. Llandegai
Evans, — Owen, Gwernydd
Evans, — R. W., Carneddi
Evans, — Owen, Parc
Evans, — Daniel, Penybryn
Evans, — Rd., Caellwyngrydd
Evans, — Pierce J., Llanllechid
Evans, — William, Carneddi
Evans, — John, Capel y Graig
Evans, — John, Bethesda
Evans, — John J., Water Street
Evans, — Owen, Ddolyparc
Evans, — Griff., Hen Durnpike
Evans, — Griffith, Bontuchaf
Evans, — W., Gwaenygwiail
Evans, — Richard, Gerlan
Evans, — John, Tre'rgarth
Evans, — Moses, Gerlan
Evans, — Hugh, Water Street
Evans, — David eto
Evans, — J., Drug., Bethesda
Francis, Ysw., J., Brynderwen 5
Francis, Mr. Edward, Pontwern
Griffiths, Ysw., M., Cilfodan
Griffiths, Mr. W., Clerk, Bryn Hafod y Wern Quarry 2
Griffiths, — David, Garneddwen
Griffiths, — David, (ieu.) eto
Griffiths, — William, Treflys
Griffiths, — John E., Bontuchaf
Griffiths, — John, Tanybwlch
Griffiths, — John M., Gerlan
Griffiths, — Jacob, Bethesda
Griffiths, — John, Hen Gapel
Griffiths, — Griffith, Penybryn
Griffiths, — Lewis, Tanyrhiw
Griffiths, — John, Gerlan
Griffiths, — H. R., Penisa'rnant
Griffiths, — John, Gors
Griffiths, — Robert, Penisa'rallt
Griffiths, — Griffith, eto
Griffiths, — William, Tanyrhiw
Griffiths, — John, Hen barc
Griffiths, — Elias, Penybonc
Griffiths, — Henry, Bontuchaf
Griffiths, — John, Bryncul
Griffiths, — John, Carneddi
Griffiths, — William, Cilfodan
Griffiths, — John, eto 2
Griffiths, — Thomas, Caegarw
Glynne, — William, Bethesda
Goodman, Mr. G. Druggist, eto
Hughes, Parch. T., Carnarvon 3
Hughes, — O. H., Shiloh 10
Hughes, Dr. Hugh, Bethesda
Hughes, Mr. T. *Rel. Officer* eto
Hughes, — R., Ogwen Ter. eto
Hughes, — Thomas J., Cilfodan
Hughes, — Hugh, Tyntwr
Hughes, — Robert, Tanyfoel
Hughes, — Derfel, Pendinas 2
Hughes, — W. Tailor, Bethesda
Hughes. — G., Caellwyngrydd
Hughes, — Hugh, Carneddi
Hughes, — William, Waenwen
Hughes, — Owen, Coedyparc 4
Hughes, — Hugh, Bronydd
Hughes, — Joseph, Ogwen Ter.
Hughes, — W., Sportsman, Ban.
Hughes, — T., Man. House, eto
Hughes, — John, Halfway
Hughes, — Hugh, Bethesda
Hughes, — John Waterloo, eto 3
Hughes, — R., Caellwyngrydd
Hughes, — Michael, eto
Hughes, — J., Gwaenygwiail
Hughes, — Evan, eto
Hughes, — Griffith, Gerlan
Hughes, — Henry, Henbarc
Hughes, — Robert, Gerlan
Hughes, — John, Gerlan
Hughes, — Robert, Penybryn
Hughes, — Hugh, Frondeg
Hughes — W , Ffrwdgaled
Hughes, — W., Caellwyngrydd
Hughes, — William, Penybryn
Hughes, — Thomas, Gefnan
Hughes, — Hugh, Bontuchaf
Hughes, — William, Bryntirion
Hughes, — H. W., Braichmelyn
Hughes, — John, Wern
Hughes, — M., Caellwyngrydd
Hughes, — Hugh, Gerlan
Hughes, — Hugh D., St. Ann's
Hughes, — Hugh, Caergo
Hughes, — Joseph, Tre'rgarth
Hughes, — O., Caellwyngrydd
Hughes, — Robert, Tynyffridd
Hughes, — John, Carneddi 2
Hughes, — William, Sling
Hughes, .. Hugh W., Rachub
Hughes, .. John, Sling

Hughes, Mr. Rd., Pontwern
Hughes, .. Robert, Hirdir
Hughes, .. Hugh, Gelli
Hughes, .. Henry, Pant-y-lon
Hughes, .. John, Cilgeraint
Hughes, .. D., Cenfaes Terrace
Hughes, .. William, Rhiwlas
Hughes, .. Griffith, Carneddi
Hughes, .. Hugh, Craig y Pandy
Hughes, .. Humphrey, Braich
Hughes, .. Thomas, Carneddi
Hughes, .. Robert, Penybryn
Humphrey .. Pirs, Talybont
Humphrey .. John, Gerlan
Humphrey, .. John, (ieu) eto
Humphrey, .. Rd., Penybryn
Humphrey, .. Owen, Tre'rgarth
Humphrey, .. John, Gefnan
Hardie, Ysw., W. Y., Bangor
James, Parch. G., Tabernacl
Jenkins, .. John, Glanogwen
Jones, .. W., Rhosymedre 5
" .. David, Gelli
" .. D., (Dewi Arfon),
" .. W., Llanllyfni 3
" .. Hugh, Shiloh
" .. Griff., Tre'rgarth
" .. Iohn, Carneddi 2
" .. R. Llystyn,
" .. I., Siloam, Bethesda
" .. W., Dwyrain
" .. Robert, Bethesda
" .. Richard, Jerusalem
" .. J. O., Jerusalem
" .. William R., eto
" Ysw., H. Ll., Bangor
" Mr. J., Inspector,Bangor
" .. W., Registrar, eto
" .. H., Castle Bank, eto
" .. Owen, Erwfair, eto
" .. T., Port Penrhyn,
" .. T., Org. Llandegai 3
" .. H. B., Garmonydd 6
" .. G., Og. Ter., Bethesda
" .. David D., Coedyparc
" .. Hugh, Ciltreflys
" .. William, Caeclochydd
" .. John W., Bethesda
" .. D. Ogwen, Coedparc 6
" .. D. (Eos Mai), Rhiwlas
" .. William R. Tynycoed

Jones, Mr. David, Tanyfoel.
" — Rt. Geo. Inn, Carneddi
" — O. Brynhafod y wern
" — Owen, Carneddi.
" — Hugh, Chwarel Goch 2
" — Wm., Caellwyngrydd.
" — Rd., Cae Chwarel, eto
" — Zachariah, eto
" — Joseph, Waenwen
" — Zachariah, Plas Pistill
" — R., (Trebor Pencraig)
" — David, Penybryn
" — D. W., Llanllechid
" — Thomas, Braichmelyn
" — G. Dilledydd., Rachub
" — Griffith, (ieu), eto
" — Edward, B. S., Rachub
" — John, Hen Durnpike
" — H., Clochydd Llandegai
" — William, Bethesda
" — T., London House, eto
" — Rd., Pork Shop, eto
" — John, Bookseller, eto 6
" — Robert, Glanmeirig
" — Thomas, Brynderwas
" — Moses, Shop, Treflys
" — H., Baker, Penybryn
" — D., Cilfodan Street
" — Evan, Dilled., Bethesda
" — R., New ClothHall, eto
" — Owen, Shop, Brynteg
" — Rt., Shop, Cilgeraint
" — Morris, Bronydd
" — David, Brynllys.
" — John L., Braichmelyn
" — Richard, Rachub
" — Ellis, Parc 2
" .. D., Llidiartygwenyn
" .. William, Fronbant
" .. Thomas, Pantdreiniog
" .. Robert, Carneddi
" .. R. Caellwyngrydd
" .. D., Mynydd Llandegai
" .. John, Tre'rgarth
" .. Robert, Carneddi
" .. Daniel, Gerlan.
" .. Daniel, Maesgaradog
" .. Pierce, Braich-Ty-du
" .. John, Braichmelyn.
" .. Hugh, Caergroes
" .. William, Cilfodan

Jones Mr. John, Craig Pandy
" .. Thomas, Cefncwlyn
" .. Hugh Bethesda
" .. Hugh, Bethesda
" .. John E., Tre'rgarth
" .. J. E. Bwlchyffordd
" .. Richard, Voty
" .. T., Caellwyngrydd
" .. J. W. Caellwyngrydd
" .. William, Craigpandy
" .. William, Twr
" .. Evan, Maesgaradog
" .. Owen, Tyntwr
" .. S., Mynydd Llandegai
" .. Griffith, Pantdreiniog
" .. David, Cilfodan
" .. William, Gwernydd
" .. Richard, Tre'rgarth
" .. Hugh, Gerlan
" .. Owen, Craigpandy
" .. William T., Gerlan
" .. Robert, Carneddi
" .. William, Penyparc
" .. Evan, Penybryn
" .. D. D., Llanllechid
" .. Henry, Brynhyfryd
" .. Ismael, Maesgaradog
" .. Joseph D., Dolhelig
" .. Owen, Cilfodan Terrace
" .. Henry, Bontuchaf
" .. William, Llety
" .. William Rhiwlas
" .. Evan, Tre'rgarth
" .. John E., Tynyclawdd
" .. Robert, Sling
" .. Richard, Rhydygroes
" .. John, Chwarelgoch
" .. John, Gerlan
" .. Hugh, Tyddyn Uchaf
" .. Rt.,PenygraigBethesda
" .. J. James, Tanyffordd
" .. John R., Plas Jolly
" .. David, Tynymaes
" .. Henry, Cilfodan St.
" .. Lewis T., Braichmelyn
" .. John T., Tre'rgarth
" .. David, Tŷ Hen
" .. John, Penybryn
" .. Evan, Tŷ Hēn
" .. Evan, Tairmynydd
" .. John, Glanmeirig

Jones Mr. Richard, Brynllys
" .. William, Caeherfin
" .. William, Braichmelyn
" .. Thomas, Tre'rgarth
" .. William, Rachub
" .. Thomas, Pantdreiniog
" .. B. Castle Inn, Bethesda
" .. Benjamin, Tynyffridd
" .. Abraham, Tre'rgarth
" .. John, Bryntwrw
" .. Evan, Gwaenygwiail
" .. William, Glanmeirig
" .. B. W., Glanygors
" .. W., Tan-yr-Hirdir
" .. Richard, Penycaunant
" .. John, St. Ann's
" .. Thomas, Tynymaes
" .. William T., eto
" .. David, Rocker
" .. Edward, Freithwen
" .. Samuel, Hirdir
" .. William, Bontuchaf
" .. Griffith, Bwlchyffordd
" .. John, *R.* Tynymaes
" .. Robert, Penybryn
" .. William, Cilfodan St
" .. Robert, Rhiwlas
" .. S., Caellwyngrydd
" .. Richard, Gefnan
" .. William, Fairview
" .. John, Carfan
" .. Cornelius, Gerlan
" .. Richard, Winllan
" .. William, Chwarelgoch
" .. Hugh, Carneddi
" .. Ellis, Glanygors
" .. Owen, Rhydygroes
" .. W. M. Braichmelyn
" .. William, Talysarn
" .. Morris, Brynllys
" .. Richard, Y Coed
" .. John, Tanyrallt
" .. Thomas, Tŷ Gwyn
" .. John, Ffynon Bach
" .. Griffith, Pant Caerhun
" .. Richard, Abercaseg
" Miss Ann, Halfway
James, Mr. Rd., Braichmelyn
James .. William, Gwernydd
John,.. Thomas, Cae'rwern
Knowles, .. John T., Glan'rafon

Knowles, Mr. Thos, Freithwen
Lewis, .. T., Mar. Place Ban. 2
Lewis, .. John, Tros y ffordd.
Lewis, .. John, Gwernydd
Lewis, .. Lewis, Carneddi
Lewis, .. David, Brynllys
Lewis, .. Henry, Pentir
Lewis, .. R. Tabernacl Terrace
Lewis, .. Rd., Pantyffrwdlas
Llystyn, .. J. J., Tairmynydd
Lloyd, .. W. T., Abercaseg
Lloyd, .. David, Brynllys
Lloyd, .. R. W., E. Cilgeraint
Morgans, Parch. W. Llandegai 5
Morgans, .. J., Glanogwen 2
Morris, .. David, Cae Athraw
Morris, Ysw., R., Brynllwyd 2
Morris, Mr. Owen, Bangor
Morris, .. John, Gatehouse
Morris, .. Hugh, Cilfodan
Morris, .. Lloyd, Plashofa
Morris, .. Thos., Bethesda
Morris, .. John, eto
Morris, .. Rd., Llwybrmain
Morris, .. Robert, eto
Morris, .. W., Glanrafon
Morris, .. Thomas, Gerlan
Morris, .. John, Tanygarth
Morris, .. R., Caellwyngrydd
Morris, .. John, Yr Ynys
Morris, .. W. W. Braichmelyn
Morris, .. W., Felin Hen
Morgan, .. E. Caellwyngrydd
Morgan, .. Thos, Tre'rgarth
Moses, .. Luke Bryneglwys
Moses, .. Rt. Rt. Carneddi
Moses, .. Henry Robert eto
Owens, Parch. John Hermon
Owens, .. John Jerusalem
Owens, .. W. Carneddi Road
Owens, .. O. Siloam, Bethes.
Owens, Mr. J., Foundry, Bangor
Owens, .. T. H. Nat., Sch. eto
Owens, .. E., Nat. Sch. Rachub
Owens, .. Robert, Cilfodan
Owens, .. E. Nat. Sch. Glanog.
Owens, .. Rd. Brynteg
Owens, .. W. Caellwyngrydd
Owens, .. W. 18, South eto
Owens, .. Owen, Bontuchaf
Owens, .. Daniel, Caergroes

Owens, Mr. R. P., Tymawr
Owens, .. J., Bethesda
Owens, .. O. W., Penybryn
Owens, .. Wm., Bodfeirig
Owens, .. Owen, Freithwen
Owens, .. William, eto
Owens, .. G. Braichtalog
Owens, .. William eto
Owens, .. William, Gerlan
Owens, .. O., Caeaugleision
Owens, .. W., Trosywaen 3
Owens, .. Griff., Gwernydd
Owens, .. H., Trosywaen
Owens, .. Owen, Moelyci
Owens, .. John, Carneddi
Owens, .. Owen, Tanyrhiw
Owens, .. Owen, Braichtalog
Owens, .. Owen, Fronbant
Owens, .. Richd., Tre'rgarth
Owens, .. Owen, eto
Owens, .. J., Hendurnpike
Owens, .. Robert, Carneddi
Owens. .. Owen, Coed
Owens, .. Jn. T., Bontuchaf
Owens, .. John, Pentir
Oliver .. R, Caellwyngrydd
Parry, Parch. D., Llanllechid
Parry, Ysw., Thos. T. Bodifyr, Bangor 6
Parry, Mr. Tho. H. Bangor
Parry, .. W. W. Llanymddyfri 6
Parry, .. Robert Carneddi
Parry, .. John eto
Parry, .. Ellis eto
Parry, .. Henry eto
Parry, Miss Mary eto 2
Parry, .. Elizabeth eto
Parry, .. Ann, eto
Parry, Mr. Rt. J., Penybryn
Parry, .. R. W., Cilfodan
Parry, .. John, Water Street
Parry, .. Hugh, Pant Hwfa
Parry, .. D. Meddyg, Bethesda
Parry, .. William, Cilfodan
Parry, .. Thomas, Gerlan
Parry, .. Rd., Caellwyngrydd
Parry, .. John John, Gerlan
Parry, .. John, Jerusalem
Parry, .. John, Bryncul
Parry, .. Edward, Bryncul
Parry, .. Hugh, Caellwyngrydd

Parry, Mr. J., Myn., Llandegai
Parry, — William, Bethesda
Parry, — Daniel, St. Ann's
Parry, — H. G., Penisa'rnant
Parry, — Owen, Tanybwlch
Parry, — Grif., Llidiarygwenyn
Parry, — Evan E., Penybryn
Parry, — Thomas, Rocker
Parry, — Richard, Gwernydd
Parry, — David, Coedyparc
Parry, — Robert, Tanyffordd
Parry, — Henry, Chwarelgoch
Parry, — Moses, Caellwyngrydd
Parry, — Hugh, Fedw, eto
Parry, — Richard, Penybryn
Parry, — David, Caellwyngrydd
Parry, — Wm., Coetmor Arms
Parry, — John, Tŷ Hen
Parry, — Robert, Sling
Parry, — David, Gerlan
Parry, — Evan, Frondeg
Parry, — William, Brynllys
Parry, — Richard, Bangor
Pritchard, Ysw. W., Tanycoed 2
Pritchard, Mr. J., Arwerthwr eto
Pritchard, — W.H., Bethesda 12
Pritchard, — H., Tynycoed 2
Pritchard, — J., Gaerwenydd 6
Pritchard, — R.., J. Carneddi
Pritchard, — W. W., Caellwyn.
Pritchard, — Griffith, eto
Pritchard, — William, Ciltwllan
Pritchard, — W., Hendurnpike
Pritchard, — David, Hafod-Tŷ
Pritchard, — Robert, Ciltwllan
Pritchard, — R. R., Myn., Llan.
Pritchard, — W.O., Braichmelyn
Pritchard, — Thomas, eto
Pritchard, — Richard, eto
Pritchard, — Richard, eto
Pritchard, — R., Hendurnpike
Pritchard, — T., Braich-tŷ-du
Pritchard, — Richard, Topycae
Pritchard, — Robert, Tanybryn
Pritchard, — David, Brynhyfryd
Pritchard, — Thomas, Talybont
Pritchard, — John, Foty
Pritchard, — John, Tanyrhirdir
Pritchard, — T., Caellwyngrydd
Pritchard, .. Thomas, eto
Pritchard, — J. P., Dolhelig
Pritchard, Mr. Wm., Craiglwyd
Pritchard, — Robert, Penybryn
Pritchard, — R., Brynhafodwern
Pritchard, — H., Craig y Pandy
Pritchard, — R. H., Carneddi
Pritchard, — Robert, Bryniau
Pritchard, — John, Tai-Duon
Pritchard, — Richard, Tanyfoel
Pritchard, — J. G., Braichmelyn
Pritchard, — Morris, Sling
Pritchard, — Henry, Gefnan
Pritchard, — Rt. H., Penybryn
Priestley, Parch. R. E., M.A.
Price, Parch. J., M.A., Bangor
Price, Mr. William, Carneddi
Price, — William, (ieu.), eto
Price, — Robert, Tanyfoel
Price, — Robert, (ieu.,) eto
Price, — David, Braichmelyn
Price, — John, Talybont
Price, — William, Gerlan 4
Prees, — G. W., Upper Bangor 2
Prees, — R. G., Camgymro 2
Pierce, — Henry, Pantdreiniog
Pierce, — T., Caellwyngrydd
Pierce, — Owen, Talybont
Pierce, — Owen, Penycaunant
Patrick, — R., N. S., Tyntwr
Peter, — Hugh, Tairmynydd
Prydderch, — T., Cefngrisiau
Powell, — Pirs, Braich-Tŷ-Du
Phillip, — Owen, Bethesda
Roberts, Parch. D., Mostyn 4
Roberts, — Robert, Carneddi
Roberts, — W., Abergele 2
Roberts, — Thomas, Jerusalem
Roberts, Ysw., H.A., Brynmeirig
Roberts, Mr.E. ShopCarneddi 2
Roberts, — Benjamin, eto 2
Roberts, — R. OrganyddBangor
Roberts, — Mesach, Druggist eto
Roberts, — John, Bangor 2
Roberts, — R., Cross Key's, eto 4
Roberts, — R., Postmaster eto
Roberts, — J., Upper Bangor 6
Roberts, — Griffith, Penybryn
Roberts, — David, (Alawydd)
Roberts, — Evan, Pant Hwfa
Roberts, — Robert, Tanygarth
Roberts, — William W., Wern
Roberts, — J.J., Caellwyngrydd

Roberts, Mr. Rt., Caellwyngrydd
" — Wm., Gwaenygwiail
" — Levi, Llanllechid
" — H., Braichmelyn
" — Wm. Rd., eto
" — Joseph, Penybryn
" — John, Chwarelgoch
" — Robert, Bryntirion
" — Hugh, Hirdir
" — T., Star, Bethesda 12
" — John H., Tanyfoel
" — Owen Hywel, eto
" — W., Tailor, Bethesda
" — William, (ieu). eto
" — T. J., Llandegai
" — G., Tailor, Bethesda
" — John, Carneddi
" — William, Corbri
" — J., Caellwyngrydd
" — Robert, Penybryn
" — William, Coedyparc
" — William W., eto
" — Rt. W., Brynllwydd
" — David, Felinhen
" — T., Caellwyngrydd
" — Daniel, Cilfodan
" — William, Gerlan
" — Robert, eto
" — W., GrisiauCochion
" — William, Cilfodan
" — Moses, Llwynhandir
" — Hugh, Tynymaes
" — Rt., Caellwyngrydd
" — Griffith, Penygroes
" — Samuel, Brynteg
" — George, Bryntirion
" — Richard, Penybryn
" — Robt., Braichmelyn
" — Robert, Rhiwlas
" — T., Myn. Llandegai
" — Robert H., Gefnan
" — John, Tanybwlch
" — W., Penarbronydd
" — John, Tanyrallt
" — Hugh O., Penybryn
" — John W., Bethesda
" — J., Myn. Llandegai
" — W., Caellwyngrydd
" — John, Fedw, eto
" — D., Shop, Carneddi
" — R. W., Caergroes

Roberts, Mr. H., Pantdreiniog
" — Robert, Tynylon
" — Robert, Glasinfryn
" — Robt., Garneddwen
" — Morris, Rhydygroes
" — R. W., Bontuchaf
" — John, Penybryn
" — Henry, Amana
" — D., Caellwyngrydd
" — H., Caerberllan
" — Hugh, Llanfair
" — John, Gwernydd
" — D. Caellwyngrydd
" — Hugh, Braich
" — H., Cefnfaes Terace
" — H., Tre'rgarth
" — John, Coed Hywel
" — W., Penybontuchaf
Richards, — Samuel, U. Bangor
Richards, — R., Reporter eto
Rogers, — W. T., Beaumaris 2
Rowlands, Parch. D. M. A. Bangor
" Mr. G., AsaphBethesda
" — John, Nant-y-Ty
" — Thomas, eto
" — Robert, eto
" — John, Penybryn
" — Hugh, Bethesda
" — Edward, Gof eto
" .. John, eto
" .. W., Tanygadlas
" .. John, eto
" .. John Gwaenygwiail
" .. Evan, Tynymaes
" .. William, Pentir
Stephens, Parch. E., Tanymarian
Salt, Mr., Joseph, Bethesda 6
Sheppard, .. J.H. DouglasArms
Samuel, .. William, Waenwen
Samuel, .. W., Caellwyngrydd
Thomas, Parch. D. W. St. Ann's
Thomas, .. Moses, Llanrug 10
Thomas, Ysw., J., Minffordd 6
Thomas, Mr. O., Port Penrhyn
Thomas, .. W., Abercegin 6
Thomas, .. J. G., Bangor
Thomas, .. E. W. Or., St. Ann's
Thomas, .. John, Penygroes 6
Thomas, .. G., Braichmelyn 6
Thomas, .. D, W., Bethesda 5
Thomas, Ysw., Joseph, L—pool

Thomas, Mr. W., Penybryn
Thomas, .. Jeremiah, eto
Thomas, .. John, Tynyclwt
Thomas, .. Evan J., eto
Thomas, .. Benjamin, eto
Thomas, .. Hugh, Llanllechid
Thomas, .. Rowland, eto
Thomas, .. Owen,Gof,Carneddi
Thomas, .. Rees, Bethesda
Thomas, .. Jeremiah W., eto
Thomas, .. Thomas, Wern
Thomas, .. Enoch, eto
Thomas, .. John, Gatehouse
Thomas, .. Richard, Cilfodan
Thomas, .. R.D.,BankBangor 3
Thomas, .. Griffith, Talysarn
Thomas, .. John W., Coedyparc
Thomas, .. John, Tyddyn Du
Thomas, .. Wm., Tanybraich
Thomas, .. W., Shop, Talybont
Thomas, ..W.,Cerygllwydion
Thomas, ..J.LlangristiolusMōn
Thomas,MissM. N.S. D-gyfylchi
Thomas, Mr. W., Pantygwair
Thomas, .. John, Tanyfoel
Thomas, .. W., Caellwyngrydd
Thomas, ..W.E.Cerygllwydion
Thomas, .. Evan, Bontuchaf
Thomas, .. John, Braichmelyn
Thomas, — John, Water Street
Thomas, .. John, Gerlan
Thomas, .. Wm., Braichmelyn
Thomas, .. William, Hall
Thomas, .. Robert., Tynymaes
Thomas, .. John, Rhiwlas
Thomas, .. Robert, eto
Thomas,..D.(*Bardd*)Glasinfryn
Thomas, .. Robt. R,, Bontuchaf
Thomas, .. Evan, Pantygwair
Thomas, .. William, Coedyparc
Thomas, .. R., Tan yr Hirdir
Thomas, .. Owen, Tre'rgath
Thomas, .. Rees, Rachub
Thomas, .. Wm., Braichtalog
Thomas, .. H., Tanydderwen
Thomas, .. Owen, Tynylon
Thomas, .. Richard, Gwernydd
Thomas, .. Jeremiah, Gerlan
Thomas, .. Thomas, Yr Hall
Thomas, .. Wm., Tynyclwt
Thomas, .. John, Carneddi

Thomas, Mr. H., Chwarelgoch
Thomas, .. Wm., Llwynhandir
Thomas, .. Evan, Penybryn
Thomas, .. John, Nant y Tŷ
Thomas, .. Robt., Pantygwair
Thomas, .. Daniel J., Tynyclwt
Thomas, .. John, Pantygwair
Thomas, .. Hugh, Perthi
Thomas, .. Owen, Tre'rgarth
Thomas, .. W.J.Llidiartygwen.
Thomas, .. William, Penybryn
Thomas, .. Thomas J., eto
Thomas, .. Thomas,Derwendeg
Thomas, .. W.,Tynyclwt Eben.
Taylor, .. J.,Gaswork Bethesda
Williams, Parch. Morris, Shiloh
Williams, — Thomas, Amana
Williams, — Thos., Cilfodan 6
Williams, — Hugh, Tabernacl 2
Williams, — W., Siloam, Beth.
Williams, Ysw., R., Goruchwyliwr Rhiwbryfdir, Ffestiniog 20
Williams,Mr.W.,Bal.Hotel eto 12
Williams,—O.(O.Glyndwr)eto 13
Williams,—W., St. Paul's Bang.
Williams,—R., Ship Inn eto 4
Williams,.. J., Egles Inn eto 6
Williams, .. Peter, Erw Fair eto
Williams,..J., Bangor Cathedral
Williams,..M., Skerries Inn eto
Williams,..G. M., eto eto eto
Williams,Mrs.Susannah, Bangor
Williams, Mr. John, Tanycoed 5
Williams, .. W., Penybryn 2
Williams, Ysw., J., (*Gorfoniawg o Arfon*), Liverpool 4
Williams, .. Mr. D., Dinorwig 2
Williams, .. W., Slate M. Cot.
Williams, .. Benjamin, eto
Williams, .. E. Shop Carneddi 2
Williams, .. John, Tyntwr
Williams, .. Owen, Tyntwr
Williams,.. J. W., Pantdreiniog
Williams,..J., (Heilyn), Fedw
Williams,..W.Bwll Llanllechid
Williams,.. Jno. Red Lion eto 3
Williams, .. John, (ieu.) eto
Williams,..Rd., Caellwyngrydd
Williams,..E.Ph.(ieu).Bethesda
Williams, .. T., Wellington eto
Williams,..W.P., Og. Brew. eto

Williams, Mr. J. P., eto eto eto
Williams,..James, Grocer eto
Williams,..John, Butcher eto
Williams, Mr. John, Hirdir
Williams, .. John, Hirdir
Williams, .. Thos., Llanllechid
Williams,.. E. Llanllechid
Williams,..W. E., Coedyparc
Williams, .. ., Penrhyn Hosp.
Williams, .. David, Twrtai
Williams,..J. Carrier Penybryn
Williams,..W. J., Ty Cefn
Williams,..Wm., (Eos Derwas)
Williams,..W., Caellwyngrydd
Williams,..W., Caellwyngrydd
Williams, .. David, eto
Williams, .. Owen, eto
Williams, .. Robert, eto
Williams, Miss Cath. Carneddi
Williams, Mr. William, Gerlan
Williams, .. W. Myn. Llandegai
Williams, .. O., Cefnybryniau
Williams, .. Robert, Penygroes
Williams, .. W. W., Brynllwyd
Williams, .. W.W.M.Llandegai
Williams, .. John, Braichtalog
Williams, .. Wm., O. Tyntwr
Williams, .. Robert, Penybryn
Williams, .. T. Enoch eto
Williams, ..W., Gof, Penygraig
Williams, .. Hugh, Tanyfoel
Williams, .. Owen, Llanllechid
Williams, .. Richd., Graiglwyd
Williams, .. Robt. W. Carneddi
Williams, ..Henry, Nantygraen
Williams, .. Wm., Penyffridd
Williams, .. Owen, Rhiwlas
Williams, .. John, Capel Cwta
Williams, .. John, Braichmelyn
Williams, .. William, Bethesda
Williams, .. Robert, Penybryn
Williams, ..David, Ffynonbach
Williams, .. Benjamin, eto
Williams, .. Owen, Penyffridd
Williams, .. John, Gerlan
Williams,..H.,CryddCarneddi 2
Williams, .. David, Frondeg
Williams, ..R. M., Braichmelyn
Willliams, ..Robt. Llwynhandir
Williams, ..Owen, Nantygraen
Williams, .. David, eto
Williams,Mr.Wm., Llwybrmain
Williams, .. Robt. Coedyparc
Williams, .. Owen, Tynymaes
Williams,..W J., Braichmelyn
Williams, .. W.W., Tanybwlch
Williams, .. J., Tanyr Hirdir
Williams, .. Edward, Henbarc
Williams,..David, Pantdreiniog
Williams,..Robt. Careg y Gath
Williams,..W.Llidiartygwenyn
Williams,..Hugh, O., Bethesda
Williams, .. George, Mynydd
Williams,.. William, Bodfeirig
Williams,..W.(GwilymLlechid)
Williams,..Thomas, Penyrallt
Williams,..David, Yr Allt
Williams,.. Owen,Waen,Pentir
Williams,..John, Penybryn
Williams,..Hugh, eto
Williams,..Richard Hugh, eto
Williams,..Rowland, Gerlan
Williams,..Richd. Cefnbraich
Williams,..Thos., T., Carneddi
Williams,..William, Penybryn
Williams,..G. T., Llwybrmain
Williams,..Jon. D., Cefngrisiau
Williams,..Owen, Tanylon
Williams,..John Grisiaucochion
Williams,..David, G. Coedyparc
Williams,..Michael,Caerberllan
Williams,..John, Caergroes
Williams,..Richard, Twr
Williams,..Hugh, Tre'rgarth
Williams,..W., Caellwyngrydd
Williams,..Griffith, Glanygors
Williams,..Thos., Parc y moch
Williams,..Henry, Bethesda
Williams,..Hugh,R.,Tre'rgarth
Williams,..Owen, Penybryn
Williams, .. Robt., Llanllechid
Williams, .. Hugh, Pontywern
Williams,..Rt., Caellwyngrydd
Williams,..RowlandTrosyrafon
Williams,..R.BrynHafodywern
Williams,..J., Llidiartygwenyn
Williiams,, .. R. Llwynpenddu
Williams,..Morris, Penybryn
Williams, .. Wm., Bryntirion
Williams, .. Morris, Crymlyn
Williams, .. Thomas, Bethesda
" .. William, Bowles

Williams, Mr. Rt. O., Gwernydd
Williams, .. Owen, Talybont
Williams, .. W., Caellwyngrydd
Williams, .. David M., Gefnan
Williams, .. Morris, eto
Williams, .. Owen, Tanybwlch
Williams, .. Wm. M., Gefnan
Williams, .. Thomas, Bethesda
Williams, .. H., Penrhiw Villa
Williams, Mr. *J*ohn, Pontywern
Williams, .. Thomas, Hengapel
Williams, Mr. Ebenezer, Gerlan
Williams, .. Thomas, Bethesda
Williams, .. *R*t., Ynys-Cheurus
Williams, .. *R*obert, Bryntirion
Williams, .. Llywelyn, Bethesda
Williams, .. O. W. Pantreiniog
Williams, .. *R*. Llidiartygwenyn

